E. L. Parry

Y Marw wedi ei chodi yn fyw
Atebydd
Anerchiad
Beth ydyw yr Efengyl
Beth ȳw Mormoniaëth
Y Gloriau
Gau Brophwydi
Hanau
Cwcw y Don
Amddiffyniad y Saint
Adolygiad -

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"CANYS MYFI YR ARGLWYDD NI'M NEWIDIA," &c.—Malachi.

" A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, yr ail PROPHWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, RHYWIOGAETHAU TAFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded ANATHEMA."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn BROPHWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon.

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.

1845.

# RHAGYMADRODD.

---

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, HWN YDWYF." Sy'n cynal fy neheulaw : ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly ? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

# AMDDIFFYNIAD Y SAINT,

YN NGWYNEB

*Camgyhuddiadau y rhai a alwant eu hunain yn "Gwcw y Don,"*

YN Y "SEREN GOMER," IONAWR, 1847.

---

DYWEDID mai "hw, hw, a gana y gog pa le bynag yr elo;" ond wele ni wedi cael un eithriad i hyny, o leiaf, yn "Gwcw y Don." Meddylid hefyd na chanai y gwcw ond yn yr haf, a hyny yn sefydlog yn ei hardal dros ei thymmor; ond profa "Gwcw y Don" ein camsyniadau am hyn hefyd, drwy ysgrechain ei "hw, hw," yn ein clustiau ganol y gauaf, a hyny yn ddiflas a digofus iawn hefyd, fel pe bae wedi cael ei deffroi yn frawychus o'i chwsg, a dianc o'i hogof â'i phen yn agored cyn agoryd ei llygaid; ac yn lle dial ar y "*Cethlydd*" a'i deffroes, eheda heibio iddo gan ei ofn, a gwaedda ei hw, hw, ar ol rhyw ddyn o Ferthyr draw a dorodd ei glun yn y gwaith, ac a iachawyd drwy allu a daioni Duw! Ac er fod hyny yn ffaith anwadadwy, a channoedd o lygaid-dystion o hono, etto y cyntaf peth o'r bron a gofiodd y "Gwcw" [hon, ond ei barnu wrth ei llais a'i thestyn] oedd, ddarfod iddi ganu dan yr enw o "*Cwic yn Dwr,*" pan ehedai yn nghoedwig Dowlais,—mai anwiredd oedd hyny, ac na thorodd y dyn hwnw ond "asgwrn bach ei goes," ac yn awr addefa fod "*lwmp* MAWR yn aros ar ei goes [oddiwrth doriad asgwrn BACH !], hyd y nod yn mhen chwech neu saith mis wedi hyny!" Ond awn yn mlaen, tebyg mai tipyn o grygni yn ei lais a barodd yr anghyssondeb hyn; ac nid rhyfedd iddi grygu bellach, pan y mae wedi bod yn ysgrechain yr hw, hw, yna mor ddyfal o Dowlais i Gaerdydd, ac oddiyno, drwy'r *Bedyddiwr,* dros Gymru o'r bron, nes diflasu ei gwrandawwyr; a meddylid ei bod wedi ei chanu ei hun i wlad angof i gysgu. Ond y cyntaf peth a ddaeth i'w phen oedd, y byddai ei hen ganiadau yn hyfryd a newydd iawn yn Nghaerfyrddin, ac ond iddynt ddod oddiyno, y credid

hwy gan holl ddarllenwyr y *Seren.* Addawai, ond cael ei dyrchafu mor uchel â'r ser, y canai yn fwynach, ac yn ddyscleiriach ei llais nag erioed; ac yn wir, rhaid addef ei bod yn meddu rhyw eofndra anhygoel i alw ei chlecs disail yn "*ffaith,*" o barthed i'r dyn hwnw, a hithau yn gwybod gwell, ac wedi darllen tystiolaeth y dyn ei hun, a thua deg o dystion wrtho, amryw o ba rai nad ydynt yn credu athrawiaeth y Saint, a'r rhai hyn oll yn tystio yn hollol groes iddi hi. Gwel *Prophwyd y Jubili* am Gorphenaf, 1846. Pa reswm a fuasai i ddynion adnabyddus ardystio y fath beth o flaen y cyhoedd, os nad oedd yn ffaith? Oni fuasai ereill yn ei wrthbrofi yn y fan, er eu gwarth? Sicr iawn; ond a gynnygiodd rhyw rai ei wrthdystio? Naddo, ni ddarfu i neb ond y "Gwcw" nadlyd hon o fan bwy gilydd. A pha brofiadau a gynnygia yn awr i ddarllenwyr y *Seren* o'i haeriad? Dim! na wna gymmaint ag un dyn, na'i henw ei hunan ychwaith! Dim ond ei hw, hw, gâs ei hun, ac ambell gwcw ieuanc a ddysgo ei *thune* oddiwrthi! Pa ddyn yn ei synwyr a'i coelia? Mae y dyn hwnw mewn oedran fel y gall ateb drosto ei hun. Mae wedi ateb i filoedd drwy y cylchoedd hyn er y pryd hyny, gan ddwyn y *ffaith,* sef ei GLUN IACH, gydag ef, yr hyn sydd yn profi hw, hw, y "Gwcw" enllibus hon yn glecs gwneyd i gyd. Ei enw yw William Hughes; ac er dilyn ar wynt y "Gwcw" hon, y mae efe wedi myned i fyw i'ch Sir chwi, Mr. *Gomer,* a diau yr ymwel â chwithau, fel y galloch gael cyfleustra iawn i'w deimlo, ei weled, a'i groesholi hyd a fynoch; a da chwi profwch ef yn fanwl, ac os cewch rhyw dwyll yn y peth, cyhoeddwch hyny yn y *Seren,* fel y deallom ninnau, rhag ofn fod ein *llygaid* wedi ein twyllo! Ni wnaeth y dyn druan, na neb o'r Saint, "ffwdan" am y peth, na hòni na chlod na theilyngdod oddiwrth y peth, nes i'r "Gwcw" nadlyd eu gorfodi i amddiffyn y gwir, a chydnabod daioni eu Duw iddynt. Paham y casâ y "Gwcw" hyny? Rhyw adar rhyfedd yw y rhywogaeth hon o'r gwcw am gablu a difenwi. Cân hoff yw eiddo y gog; ond tebycach i regfeydd pioden yw difenwi dynion na wnaethant niwed i un blyfen o'i hesgyll, nac i neb arall, trwy eu galw yn "gau-brophwydi," "apostol clodwiw," "Joe," yn lle Joseph, "pechaduriaid rhyfygus," heb eu profi, "sothach drewedig," ebe hi am y grefydd ddwyfol ag yr ymddibyna miloedd o rai cystal â hithau arni am fywyd tragwyddol,—

"ffieiddio y fath chwedlau," ebe hi. Y fath chwedlau â pha beth, gofynwn? Dim ateb. "Eithafion rhyfyg a chelwyddau," ebe hi, yw proffes y Saint yn ol y Testament Newydd. "Mae eu celwyddau yn rhy noeth i neb yn eu synwyrau eu credu," ebe efe etto. Felly, Mrs. Gwcw, rhaid fod Cymru yn cael ei gwallgofi yn gyflym iawn, yn ol eich hw, hw, chwi a'ch cyffelyb, oherwydd y mae dros fil o honynt wedi myned allan o'u "synwyrau" mor bell yn ddiweddar â chredu yr hyn a alwch yn "gelwyddau noeth," ac ychwaneg yn myned i'r gwallgofrwydd yn feunyddiol, ac etto yn methu yn deg a chael gafael ar y celwydd hwnw ag sydd yn "noeth" i'ch golygon treiddgar chwi. Rhyfedd y fath drawssymudiad sydd ynoch: gyneu yn "Gwcw," yna yn rhegu yn waeth na phioden; yn awr wedi cael llygaid y barcut, neu *Argus* ei hun, i weled pethau mor noeth anad pawb arall? A phaham na fuasech yn amlygu peth o'r twyll er ein mwyn ninnau, cyn cyfnewid eich hun yn rhyw *species* arall etto, os gellwch. Ond ni ellir diolch i chwi. Da fuasai genych ddynoethi rhyw ddrwg pe gallech, canys burgyn a gara aderyn aflan. "Cymmeryd enw o grefydd yn gochl i dwyllo," aïe Mrs. Gwcw? Pa fodd y gwyddoch chwi hyny? Beth yw eich prawf o'r ddedfryd galed yna? Dim ateb i hyn ychwaith! Onid eich genau eich hun a brawf mai ti yw y "Gwcw" sydd yn euog o hyn? Ai tybied y bernir y dyn a ddifenwa ei gymmydogion dieuog yn y modd hyn yn ei "synwyrau?" Pwy a ymddibyna ar ddim a ddywed wedi iddi ymollwng i'r fath eithafion o ryfyg, a haeru fod y rhai y gwyr yn dda ddigon eu bod yn pregethu yr efengyl yn rhad, heb ofyn ceiniog, na gwerth ceiniog, am hyny, yn "casglu cymmaint o arian y trueiniaid ag a allant, oddiwrthynt." Dewch i brawf, Madam Gwcw. Deuwch â'ch ffeithiau, enwch y personau, ac enwn ninnau ganpunt a dwyllwyd genych chwi a'ch chwiorydd oddiar drueiniaid am bob ceiniog gafodd y Saint o gwbl er pan y maent yn Nghymru. Dewch yn mlaen etto, canys yr ydych wedi ysgrechain eich hw, hw, gâs o hirbell ddigon o hyd; rhowch eich enw i'r byd, ac enwau eich tystion, os dysgwyliwch i ddarllenwyr y *Seren*, na neb arall, eich coelio. Nid oes arnom ni gywilydd o'n henwau i wrthdystio eich cabldraethau ysgeler. Ond yn mlaen â hi gyda'i haeriadau. "Gwyddant o'r goreu mai twyll yw y cyfan," ebe hi! Atebaf

finnau na wyddant, neb o honynt, am ddim twyll, ac ni wyr y "Gwcw" annuwiol ychwaith, onide buasai wedi ei amlygu i bawb, yn lle defnyddio celwyddau hollol yn offerynau i ddial ei llid arnom, o gasineb at y gwirionedd.

Diflas fyddai swn y Gwcw a ddifenwai hyd y nod gi yr heliwr yn y goedwig; ond O mor ddifiwsig yw rhegfeydd y bioden hon pan ddringa i frigau uchel-goed y *Seren*, ac y cymmysga ei llais â pher ganiadau goreuon beirdd *Gomer*. Beth meddwch chwi, Mr. Gomer? a gofyned eich darllenwyr bob un iddo ei hun, ai rhyw fiwsig hoff fyddai ysgrechiadau fel yr uchod yn eich clustiau o hyd, yn yr heol ac yn y maes, gartref ac oddicartref, a'r oll am eich crefydd yn eich "gwlad rydd" eich hun; ïe, a'r oll yn ddisail hollol? Wel dyma yw cynnysgaeth y Saint yn awr fel erioed; ïe, er eu bod yn frodyr o'r un gwaed â chwithau. Cydiwn yn y cyhoeddiad a fynom o'r bron drwy ein gwlad, "crefyddol" neu beidio, y peth cyntaf y tarawn ein trem arno yn aml yw naill ai "*Twyll y Seintiau*," "*Rhyfyg a Chelwyddau*," "*Twyll Mormoniaeth*," neu ryw sothach am danom ni a'n crefydd, a'r cyfan yn anwireddau disail, a ninnau yn gwybod hyny, yn meddu profion o hyny, ac etto ni chawn eu cyhoeddi byth o'r bron yn y cyhoeddiad a'n cyhudda. Ac ond i chwi ddarllen y cyhoeddiadau, yn enwedig rhifynau y *Bedyddiwr* am y ddwy neu dair blynedd diweddaf, cewch yno hw, hw, y cogau hyn drosodd a thrachefn, bron air am air, am frawddegau cyfain, dan amryw ffug-enwau; ac yn rhifyn Mawrth, os na chewch enw priodol y "Gwcw" hon yn tadogi y cyfan, cewch yno ei hw, hw, yn gyflawn, neu fe siomir llawer heblaw ni. Gwyddom nad yw cyfnewid enw y gog yn newid gronyn ar ei hw, hw. Mae ein clustiau ni wedi merwino yn y cylchoedd hyn ar ei hysgrechiadau diflas; a meddylir naill ai ei bod hithau yn gwybod hyny pan ehedai i Gaerfyrddin, neu fod crytiaid Dowlais wedi ei lluchio â cherig i'r don, ac wedi ei dilyn i Gaerdydd, a hela (nid y cadno, ond) y "Gwcw" hon i Gaerfyrddin o'r diwedd. Ac os nad aflanach chwaeth eich cymmydogion chwi na phawb, buan iawn y diflasant ar ei hw, hw, yna, neu y newidiant ei henw yn *parrott*, canys y mae yr aderyn hwnw yn barotach i ddifenwi pawb o'i gylch nag yw y gog, druan, i erlid neb. Ond sicrhawn, a sicrha ein proffes a'n hymarweddiad i bawb a ymchwiliant iddynt, ein bod ni fel enwad mor hollol ddieuog o gyhuddiadau y "Gwcw" hon ag un enwad o grefyddwyr sydd yn y wlad; etto, nid ydym yn proffesu perffeithrwydd personau, ond addefwn mai ffaeledig iawn yw y goreu o honom wrth yr hyn a ddymunem fod. Gwyr y

"Gwcw" o'r goreu, a dylai pawb wybod cyn cyhoeddi ein proffes i'r byd, nad oes neb o'r Saint yn Nghymru yn hòni, nac yn cael y teitl uchel o "apostol," nac o "brophwyd," canys yr ydym wedi cyhoeddi hyny i'r byd droion. Yr ydym wedi cyhoeddi hefyd nad oes, ac na fu neb o honom yn hòni dim gallu gwyrthiol o honom ein hunain. Naddo; camgyhuddiadau yw y cyfan, pa rai, unwaith wedi eu traethu a wthir yn mlaen drwy bob cyhoeddiad o'r bron fel rigwm y rhegen ryg, a gwaith mor anorphen yw eu hargyhoeddi ag yw cael ganddynt brofi y ddwy ochr. Ond yr hyn a gredwn ni mewn perthynas i wyrthiau yw yr hyn a broffesa holl grefyddwyr Cymru ar air, sef, credwn mewn Duw a wnaeth wyrthiau drwy ei weision, yn yr ymarferiad â'r moddion neu yr ordinhadau a orchymynodd, yn y cyn-oesoedd. Ni wada neb hyn. Wel, o'r goreu, deuwch gam yn mlaen, ynte. Credwn ni fod y Duw hwnw mor alluog yn awr ag yr oedd y pryd hyny. Felly ninnau, medd pawb etto. O'r goreu, gyfeillion, dyma ni wedi cyduno yn dda; ymdrechwn gyd-deithio gam pellach. Credwn ni fod y Duw hwnw yn anghyfnewidiol. Purion, ebe chwi etto, felly y credwn ninnau, canys dywedir, "Myfi yr Arglwydd ni'm newidir." Wel, ymdrechwn fyned law yn llaw un cam pellach etto, a hyny yw, credwn ni mewn Duw *sydd yn* gwneyd gwyrthiau drwy ei weision, yn yr ymarferiad cyffelyb â'r unrhyw ordinhadau mewn ffydd, *yn yr oes hon!* O! wfft! twyll, rhyfyg cythreulig a Satanaidd: O haerllugrwydd, ebe pawb; na, na, nid ydym yn credu gair o hyna, ac ni roddwn y cam yna gyda chwi am ein bywyd, ebe chwi oll mewn dychryn!! Ond pwyllwch ronyn, ac ymresymwch; nid gwiw i chwi wrthod dyfod y cam diweddaf gyda ni, oherwydd yr ydych eisoes wedi ei addef. Yr ydych wedi dyfod yn rhy bell i'r ddalfa i droi yn ol byth; canys addef fod Duw anghyfnewidiol wedi gwneyd gwyrthiau ydyw addef ei fod yn gwneyd gwyrthiau yn awr ar yr un ammodau. *Ac felly addefa holl Sectariaid y wlad yr un peth yn gymhwys ag a wna y Saint o barthed i wyrthiau! Well done*, gyfeillion hynaws, peidiwch a chablu a difenwi y Saint byth etto, a chwithau yn proffesu yr un peth â hwythau am wyrthiau, onide bydd anffyddwyr yn chwerthin am ben eich ffolineb croeshaeriadol. Yr ydych wedi terfynu y ddadl boeth hon yn deg, ac wedi dyfod i'n pen ni o'r glorian; o'r goreu, arhoswch ynddi, ac ni chwympwn i maes ddim ychwaneg.

Ond i ddilyn y "Gwcw" etto, dywed fod *Seren y Saint* yn dweyd fod Duw wedi dangos Llyfr Mormon i Joseph Smith mewn "ogof;" ond hawdd yw profi yr haeriad hwn, fel y lleill, yn ddisail, drwy fod y

Myfi a elwir *Seren y Saint* ar led Cymru wrth y cannoedd; ac er nad oes ynddi air heblaw a ysgrifenodd y dwylaw hyn, etto nid ydym yn gwybod fod son am "ogof" ynddi oll. Os oes, parod ydym i gymmeryd ein hargyhoeddi, a hawdd i'r "Gwcw" enwi y rhifyn, a'r tudalen, os yw yno, onide barned y darllenydd rhyngom ni a hithau â'r gwir. Fe buasai y "Gwcw" hon yn anialwch Libanus pan anfonodd Duw angel i awdurdodi Ioan Fedyddiwr i bregethu a bedyddio, a chanddi allwedd crediniaeth yr Iuddewon dan ei haden, fel y cyfeiria fod trigolion y "Ton," canasai drwy holl wlad Judea fel y gwna drwy Gymru, y buasai mor rhesymol iddi hi *lyncu mynydd* Libanus neu yr Olewwydd â chredu dyfodiad yr angel hwnw!

Hen rigwm arall o eiddo y "Gwcw" hon yw, "Ond cofiwch, Mr. Gomer, (ebe hi,) nad oes yn perthyn i'r *gethern (!!)* dan sylw ond ychydig o wehilion mwyaf anwybodus a diarwyddion o ofn Duw yn y manau lle y maent." Gwel hyn etto yn rhifyn Mawrth o'r *Bedyddiwr*, &c., ac yn nhraethawd ffol ac anwireddus y Parch. W. R. Davies, Dowlais, ar y gwyrthiau. Ychydig, lleiaf, llai; gwael, gwaelaf, gwaelach; drwg, gwaethaf, gwaeth; dyna yw ei haeriadau anwireddus ac annuwiol o hyd. Pa fodd y mae y fath *lawer* yn ymadael oddiwrth y fath *ychydig*, tybied, a gweddill wed'yn? Am ein gwrthgilwyr, parod ydym i rifo degau o rai sectaraidd am bob un sy'n gadael y Saint. Amlwg yw mai ei ddymuniad a eilw efe yn ffaith! Ond diolch i'r hwn a bia y gwaith, y ffaith yw ein bod yn hollol groes yn mhob peth i'r cyhuddiadau gwarthus uchod; ïe, y ffaith a welir yn hanes ein Cymmanfa ddiweddaf yn Merthyr: gwel *Prophwyd y Jubili* am Ionawr, 1847, lle y dangosir ein bod yn cynnyddu yn fwy nag un enwad a adwaenom yn y wlad. Dygwyd enwau yn agos i *dri chant a hanner* a fedyddiwyd genym er Gorphenhaf diweddaf; a thros gant yn Merthyr yn unig, o blith pob enwad sydd yno bron; ac nid yn unig yr oedd rhai o'r rhai hyn wedi bod yn aelodau gyda'r enwadau am ddeg-ar-hugain neu fwy o flynyddau, ond yr oedd hefyd diaconiaid, blaenoriaid, ac amryw bregethwyr a gyfrifid ganddynt yn wyr doniol a duwiol. Rhyfedd ein bod mor *ychydig* o hyd. Am y *gwehilion*, fel eu geilw, y maent yn feddiannol ar eneidiau anfarwol ag sydd mor deilwng o'u hachub ag yr oedd yr "ysgubion y byd, a sorod pob dim," hyny yn nyddiau yr apostolion. Os *gwehilion* sydd gyda ni oll, addefwch nad ceisio "arian" lawer yr ydym gan y cyfryw, ond "i'r tylodion yn rhad" fel cynt. Os "mwyaf anwybodus o bawb ydynt," eich bai chwi, a'u dysgawdwyr blaenorol, yw hyny, a mwyaf yr anghen iddynt ddyfod i'n

hysgol ni i ddysgu rhyw ddaioni cyn eu marw mor anwybodus â'u cydysgolheigion sectaraidd ereill, a goreu po cyntaf i'r lleill ddyfod; a da genym weled y rhai gonestaf eu calon o honynt yn dyfod at Iesu ar ddarfod am danynt i geisio deall "pa beth a wnant i fod yn gadwedig." Yr ydym ninnau yn dangos y ffordd iddynt o'n bodd, heb arian ac heb werth; a rhyfedd mor llawen a diolchgar ydynt, druain, am gael eu rhyddhau o'ch caethiwed tost chwi; a da chwi, Mrs. Gwcw, gadewch lonydd i'w cymmeriadau, fel yr addolont Dduw yn ol yr ysgrythyrau; canys gwell fod maen melin am eich gwddf, a'ch suddo yn eigion y môr, nag i chwi, nac ysbrydion cyfeiliornus ereill, roi rhwystrau ar ffordd y rhai bychain hyn. Y mae yn sicr y gwyddant hwy yn well beth sydd genym, wedi eiu profi, nag y gwyddoch chwi a'ch bath, heb erioed feddu digon o onestrwydd i chwilio yn deg am y gwir.

Os "mwyaf diarwyddion o ofn Duw oeddynt," pa fodd, yn enw moesoldeb heb son am grefydd, y gadawech chwi ac enwadau ereill iddynt aelodaeth, ïe swyddau, cyhyd yn eich plith? canys ni wyddom am un capel yn Merthyr a'r cylchoedd a'r nad oes rhai, ac weithiau ddegau, wedi ymadael â hwynt, ac ymuno â ni. Ie, diolch i chwi, pa rai y bu eich hw, hw, chwi a'ch cyffelyb yn foddion o'ch hanfodd i'w gyru i wrando arnom, i chwilio i'n hathrawiaeth, ac yna i gredu yr efengyl, ac i ufyddhau iddi o galon. Mae hyn yn brawf nad twyll sydd genym, fel y dywedwch chwi, ond mai po mwyaf ein hadnabyddant, mwyaf y canfyddant eich celwyddau chwi, ac yr ymlynant wrth ein gwirionedd. Ai dynion o'r cymmeriadau ysgeler uchod yw yr holl rai hyn, tybied? Onid dynion ydynt, ïe, mor resymol â chwithau, yn Gymry, ac yn ddeiliaid o'r gyfraith wladol fel chwithau? Paham na adewch iddynt y rhyddid a'r llonyddwch a ganiatâ hòno iddynt? Cywilyddiai dyn gonest rhag dangos ei hun yn fath *fwli blagardaidd*, ac arferyd eich brawddegau hyll i ddifenwi ei gymmydogion, ïe, pe bae ynddynt wir! Ai dynion o'r cymmeriadau a nodwch oedd y rhai a adawsant Ddafisyddiaeth Dowlais? Ai rhai felly oedd y diaconiaid a'u gadawsant yn ddiweddar, ac a ymunodd â'r Saint? O na, rhaid eich bod yn gwybod nad "cethern aflan" yw y Saint, ac nad "ychydig a drwg" ydynt ychwaith.

Yn nesaf, sylwer ar y "gwcw" yn hollol groes ei *thune* i'w holl chwiorydd drwy'r wlad, ac iddi ei hunan hefyd! "Gofynodd (ebe hi) i amryw a fuant gyda hwynt (y Saint), a oedd rhyw dwyll-ymddangosiad yn cael ei gario yn mlaen yn eu cyfeillachau dirgelaidd, er hudo a dallu yr annysgedig a choelgrefyddol; *a dywedent oll nad oedd*

*dim!*" Wel, dyna y gwir, nid oes "DWYLL-ymddangosiad," a phaham na choeliwch hwynt, ynte? Nid *twyll*, ond *sylwedd* yw'r cyfan sydd genym yn "ddirgelaidd," ac yn gyhoeddus. Os credwch y tystion yna "oll," pa beth sydd ynom mor dwyllodrus, ynte? Paham yr haerwch fod, a'n difenwi oherwydd hyny? Ond pa fodd yr ymdarewch chwi â'ch cyd-erlidwyr annuwiol yn hyn? Beth a bregetha y gwcw o Ddowlais o gapel bwy gilydd, ac a gyhoeddodd yn y *Bedyddiwr* droion, ac wed'yn yn ei draethodyn gwarthus? Haera efe ein bod yn *llefaru* â thafodau, cyfieithu, prophwydo, cael gweledigaethau, a llawer o bethau, er twyllo yr annysgedig a'r coelgrefyddol, ebe efe; a dyry enghraifft, sef "*tandrwm, tindrwm, twndrwm,*" *&c.* Felly yr haera y Thomas Jones ysgymunedig hwnw, ebe eich "brawd efengylaidd," Dafydd Williams, Abercanaidd, drwy y *Bedyddiwr!* Ie, felly y dywedai ein holl gyhuddwyr, ein bod ni yn ffugio y doniau ysbrydol yn yr eglwys; ond gan fod hyny yn dystiolaeth i bob dyn rhesymol ein bod yn efelychu yr eglwys Apostolaidd, yn hyny o leiaf; a chan gynted y gwelodd "gwcw y Don" hyny, cymmerodd ei hadenydd i'r ochr arall i'r goedwig, a dechreua ganu ei *thune* newydd ei hun yn hollol groes i'r lleill i gyd! Wyddys pa hyd y bydd y lleill heb ei dysgu oddiwrthi! Ond yn enw *rheswm,* os oes y fath *beth* i'w gael, pa *dune* a goelir? Dewiswch chwi; ni waeth genym ni pa un a goeliwch, canys nid oes air o wir yn y naill na'r llall. Ac wele holl erlidwyr y Saint yn mhig y gwcw yn awr. Cawn ni beth llonydd ynte, nes terfynant yr ymryson â'u gilydd, ac yna profwn y trechaf o honynt yn gelwyddog! Pwy a'i coelia iddi erioed weled dynion mor annynol a gwallgof ag "addef wrthi hi y meddiannwyd hwynt yr eiliad gyntaf yr ymunasant â'r Saint, fel yr oeddent yn gallu dweyd celwydd mewn rhagrith," heb le i ddysgwyl un lleshad drwy hyny, na gobaith llwyddo ddim hwy nag y deuai ereill i'r eglwys i roddi eu llygaid, eu clustiau, a'u synwyrau ar waith? Na, anturiwn ddweyd na chreda un creadur rhesymol iddi hi na neb arall weled dynion yn y wlad a addefa y fath beth. Er mor felys yw cyhuddiadau drwg i'w chwaeth ef, mae hyn yn rhy aflan i'w gredu. Ond "tystiasant oll yn y modd mwyaf cydwybodol (ebe hwn) mai celwyddau yw *eu holl* haeriadau." Yn ddieithriad hollol, tybied? Wel, o'r goreu. Pan y byddwch yn llunio ystori o gelwydd bob gair, gwnewch hi yn iawn fel hon, ac yna dealla pawb hi. Rhaid i'r "gwcw" ein hesgusodi ni rhag credu un gair o hyn ychwaith, canys ni allwn, y mae yn rhy *blaen* i'r gwrthwyneb, heb addef gwyrthiau! Ond beth na ddywed y —— y pa beth y

galwn yr hwn a adawo i'r frawddeg a ganlyn ddianc oddirhwng ei ddannedd heb son am ddyfod yn bwyllog a bwriadol oddirhwng ei fysedd? Syned hyd y nod "ffyliaid Risca." Dyma hi! "Ac yr wyf yn cymmeryd y cyfleusdra presennol, megys ar lw yn mhresenoldeb fy Marnwr, idd eich hysbysu chwi, ynghyd â *holl ddarllenwyr y* Seren, na wnaed hyd yma un peth yn debyg i wyrth ganddynt yn un man yn Merthyr, a'r cylchoedd oddiamgylch," ebe efe!! Wel, dyma hi yn y pen eithaf yn awr! Ar y dechreu, meddyliem mai y "Gwcw" fach o'r Don oedd dan ein dwylaw, yna troes yn *Bioden* reglyd; wedi hyny deallasom mai *Parrot* oedd yr aderyn rhyfedd, nes y gwnaeth ei hun yn FARCUT ysglyfaethus; ond erbyn ei ddilyn, wele efe wedi proffesu ei hun yn Dduw bach; yn ddigon hollbresennol a hollwybodol i lanw pob man, o Ferthyr a'i chylchoedd oddiamgylch o leiaf, nos a dydd! Esgusoder ni am anturio ammau gair o hono, canys ni wyddem ein bod yn *criticiso* haeriadau un mor *hollwybodol;* canys rhaid ei fod felly yn siwr cyn y meiddia haeru, nac y gofyna i "*holl ddarllenwyr y Seren*" i gredu ei dystiolaeth unigol ef am beth NA wnaed mewn lle mor fawr a phoblogaidd; ïe, cyn y cymmerai ei *lw* mor sobr o flaen ei FARNWR (canys addefa fod iddo yntau farnwr er mor uchel y dringodd ei hunan; a druan o hono pan y saif o'i flaen! Ni fyddem yn ei esgidiau am y bydysawd) am beth na ddichon iddo, ond drwy ei hollbresennoldeb, ei wybod! Dyma i chwi "*Gwcw*" ryfeddol o uchel. Chwi SER-ddarllenyddion, beth meddech am ein "*Gwcws*" ni y ffordd hyn? Dysgwylir eich gweled yn cyrchu yma i gyd i'w gweled. Dangosir hi pan na fo yn ei chwsg, am ddimai yr un! Ac yna addefwch mai hi yw y ddoethaf neu y ddwlaf yn y "cylchoedd." Mae ei chroes-haeriadau, ei henllibau, ei difenwi, a'i chamgyhuddiadau ar ddynion oherwydd eu crefydd, yn profi nad y blaenaf yw: ond y mae ei hadenydd a'i holl gorff yn llawn o blyf y nodwedd olaf. Ond y cyhuddiad a ddengys fwyaf o'i gwenwyn, a'i hawydd chwythu ei gwreichion yn fflamau i'n llosgi, yw yr hyn a ganlyn; ac O, cywilyddied a galwed ef yn ol er ei mwyn ei hun. Dywed, "Blaenorir hwy gan ychydig a fu yn enwog yn myddin y *Chartiaid.*" "Yn cymmeryd enw o grefydd yn gochl er twyllo." Ni fyddai y dyn a gyhudda ereill o hyn ronyn yn rhy wrth-sectaraidd i daflu *ffaggots* dan ein *funeral pile*, pe gallai.

O ddyn, pa bryd y darfydda eich drygioni? Pa le yr aeth eich cydwybod, a'r teimladau a berthyna i ddynoliaeth, pa rai a deilynga eich cyd-ddynion,—eu cymmeriadau fel bodau cyfrifol, deiliaid gwlad-

wriaethol, tadau a mamau parchus gan bawb a'u hadwaenaut; ïe, brodyr a chwiorydd unwaed â chwithau, a grewyd gan yr un Duw, ac a safant etto gerbron ei frawdle yn eich gwyneb chwithau. "*Chartiaid*," aie? Pa brofion a gynnygiwch o hyn? Dylai fod genych brofion cryfion o'r fath gyhuddiad. Beth! ddim cymmaint ag un prawf o hyn ychwaith! Meiddio cyhuddo enwad cyfan o grefyddwyr o beth a ystyrir yn wrthryfel yn erbyn y llywodraeth, a dim un rheswm pam. Pa ddyn mor ddrwg â hyn erioed? Diau eich bod wedi ddeall, drwy ddarllen ein cyhoeddiadau, nad oes, ac na fu, a wnelom ni â Chartiaeth mewn un dull na chyssylltiad, fel enwad; ac er fod pob un yn ewyllysiwr rhydd o ran ei *bolitics*, ni wyddom fod un o'r Saint mewn cyssylltiad â'r Chartiaid, nac wedi bod ar ol ymuno â'r Saint. Nid ydym wrth hyn yn cyfeirio dim o blaid nac yn erbyn Chartiaeth. Nid oes a fynom â dim gwladwriaethol, ac nid y'm yn ymyraeth â *politics;* ond yn y Testament Newydd y gwelir ein rheolau eglwysig. Amlwg yw mai dyben y dyn drygionus hwn yn ein cyhuddo o hyn yw codi erlidigaeth. Y mae amryw, ïe, o bregethwyr a chrefyddwyr, wedi bod yn cario y cyhuddiad hwn at feistri y gweithiau haiarn a glô, gan sicrhau mai *Chartiaid* yw y Saint, a dymuno arnynt eu troi o'u gwaith, &c. Er mor rhyfedd y swnia hyn yn awelon gwlad "*efengylaidd*," mae yn wir am lawer y ffordd hyn. Os gwir y cyhuddiad hwn, pa fodd na roddid y cyfreithiau mewn grym i'n herbyn, bellach? Atebwn mai oherwydd fod y swyddogion gwladol, a phob dyn rhesymol arall, yn gwybod gwell, ac yn ystyried clebr yr erlidwyr hyn islaw eu sylw. Ond gwaeth-waeth yr ymddengys digywilydd-dra y "*Gwcw*," fel yr awn yn nes ati. Wedi ymdrechu â'i holl egni i gyffroi y wlad i'n herbyn, annela ei saethau at gyfreithiau y tir, er treio i'r rhai hyny ein carcharu, ac yna gwaedda, "Etto ni ddymunem er y byd fod yn euog o niweidio blewyn o wallt eu penau." O! syndod, y fath anghyssondeb! Beth ychwaneg a ddichon wneyd er cynhyrfu pawb a'i coelia i'n fflangellu, ein carcharu, ein poeni, ac i'n halltudio o'r wlad? Dim yn y byd! Aeth hyd eithaf ei fraich i hyny eisoes; a phe gallai wneyd ychwaneg, diammau y trochai ei ddwylaw mewn gwaed (ond barnu yn ol cymhariaeth). Onid y cyhuddiad hwn a alltudiodd rai eisoes? Ni all wadu hyn. Onid dyma yr arfau a wânâi y cyhuddedig yn amser Bonner ac ereill. Eu tueddiad, gwyr pawb, yw hau hadau erlidigaeth yn y calonau a'u credo, a magant genfigen, a chrawnant nes gorlifo dros eu terfynau pan allant, a boddi mewn gwaed gwirion. Gwyddom mai y clecs celwyddog hyn, a'r cyffelyb, a achosodd i ddegau o'n brodyr ffyddlon gael eu merthyru yn ddiweddar yn yr Americ, a rhai yn ein hochr a laddwyd oherwydd y cyffelyb gyhuddiadau disail. Pa wahaniaeth sydd rhwng yr ysbryd a ladd gymmeriad, ac a ladd gorff dyn? Ceir gweled ei ffrydiau ysgarlataidd cyn hir yn Nghymru yr y'm yn ofni. Ofer i'r rhai a gynneuasant y tân waeddi, nad oeddynt yn meddwl iddo losgi "blewyn o'n pennau." A llawn mor briodol y gallasai Nero ddweyd, wedi gosod Rhufain ar dân â'i ddwylaw ei hun, er cynddeiriogi y werin i ddial ar y Cristionogion, gan eu camgyhuddo hwy o'r weithred, nad oedd yn meddwl "niweidio blewyn o'u pen," ag a fyddai i awduron a phregethwyr erlidgar osod tân yn meddyliau

y werin nes ein lladd, ac yna haeru fel y gwna y "*Gwcw.*" Dywed hen air mai "cyffelyb yw lladd ci â rhoddi enw drwg arno." Diolchwn ninnau, nid i'n herlidwyr hyn, ond i gyfreithiau ein gwlad, caredigrwydd, tynerwch, a boneddigeiddiwch, y boneddigion ag ydynt yn rhy gall a theimladwy i gyflawni cais ein herlidwyr, a gweddiwn ar i'n Duw dalu daioni iddynt ar ei ganfed. Dysga ein crefydd ni i fod yn ddarostyngedig i'r awdurdodau gwladol yn mhob peth, ac felly yr y'm wedi bod, ac yn penderfynu parhau i fod. Nid dyma y tro cyntaf i'r Saint gael y cyhuddiad hwn, ond darllener yn Rhif. Mawrth o'r *Bedyddiwr* enllibus fyth, lle dywed y "*Parch.*" W. R. Davies, o Ddowlais, yn ddigon digywilydd, ein bod yn "*Ddeistiaid, Atheistiaid, a'r fath waethaf o Chartiaid.*" Ie, dyma eiriau dyn sy'n cymmeryd arno yr enw o fod yn "weinidog yr efengyl." A phwy oedd yn boethach *Charter* nag ef? Tystied ei lythyrau yn eu cyhoeddiadau, gohebydd, oedd siwr, i'w "*Udgorn.*" Y cyntaf a ddarllenasom o honynt oedd ychydig ddyddiau yn ol, a'r cyntaf peth o'r bron a dynodd ein sylw oedd enw "W. R. Davies, Dowlais," o dan amryw golofnau o'i waith, ac yn ymffrostio hefyd *nad oedd arno gywilydd o roi ei enw cyflawn ynddo.* Nid rhaid hyny er i bawb ei adnabod ef. Nid gwaeth genym ni pa faint a ysgrifenasai iddo, nac i un fan na pheth arall, ond buasai yn destun syndod fod neb ond ei *hunan* ar ol y cyfan yn cyhuddo rhai mor ddieuog â'r Saint o'r hyn ag y bu efe ei hun! Ac yn enw pob rheswm pa fodd y gall y Saint, na neb arall, lanw y tri chymmeriad a ddyry arnom? Onid yw Chartiaeth, Deistiaeth, ac Athistiaeth, yn hollol groes i'w gilydd! Addefa ein bod yn credu yn *llyfr Mormon.* Wel y mae hwnw yn hollol groes i'r ddau olaf o leiaf, ar cyntaf hefyd o ran dim a ddeallwn ni am dano. Ond sylwch chwi grefyddwyr, y rhai a fuoch yn bleidiol i Chartiaeth wrth y cannoedd o bob enwad, ac *efe ei hunan hefyd.* Cyfeiria y Davies hwn, a'r "*Gwcw,*" mai "cymmeryd enw o grefydd yn gochl er twyllo" yr ydych, a *hwythau eu hunain yr un modd wrth gwrs!* Am danom ni, yr oeddym ar gyfandir arall nes yr oedd y cyfan drosodd, ac nid oedd y Saint yn Nghymru y pryd hyny. Beth os bu rhai yn Chartiaid cyn i'r Saint ddod i'r wlad hon, a oeddynt yn anaddas wed'yn i ymuno â chrefydd am byth, *Syrs?* Beth a feddylia y lluoedd o'r cyfryw sydd yn awr gyda'r gwahanol sectau am danoch? Y cyfan tuhwnt i welliant, aie? Os nad y cyfan, paham neb? Ac os felly, dangos eich dwlni a'ch câs eich hun a wna eich gwrthddadl hon hefyd; ïe, dyma ddraen etto i gropa y "*Gwcw.*"

Rhestrodd ein henwau o'r blaen, fel y gwna ei frodyr, yn mhlith drwgweithredwyr, a'r rhai a ystyria efe y mwyaf dirmygus, megys "*Joanah Southcoate,*" "*Twist,*" "*Dic Tamar,*" *&c.;* ond ni phrofodd neb o honynt un nodwedd o'n heiddom ni yn tebygoli i'r rhai hyny, a chymhwysach y gall y Saint droi eu haeriadau yn ol, gan ddywedyd, "*Ti yw y gwr,*" wrthynt hwy. Ond er rhoi taw ar eu cegau am byth, sef y rhai a waeddant Chartiaeth ar ol y Saint, tystiwn yn ddifrifol ac eofn,—"*Nid oes, ac ni fu a wnelo y Saint â Chartiaeth, nac â dim politicaidd arall mewn un cyssylltiad.*"

Mae genym ffeithiau anwadadwy i brofi hyn. Os amheua neb, aed

i swyddfa Esgob Llandaff, a gwelir fod ein haddoldai wedi eu registro yno, ac aed at yr ynadon lle y triga ein pregethwyr, a chaiff weled fod ganddynt *license* o dan law y rhai hyny, yn ol gofyniad y gyfraith. Pe Chartiaid fuasent, a ganiateid iddynt hyny? h.y., yn ol yr ystyr ag y cyfeiria ein cyhuddwr am Chartiaeth. Ond digon ar y pen hwn etto er profi y cyhuddiad hwn hefyd mor anwireddus â'r lleill, a ffarwel i'w "*hw, hw,*" yna am byth, gobeithiwn. Cyhuddiad arall, mor ddisail etto, yw fod y Saint yn son am fyned i Jerusalem. Do, cyhoeddodd y "*Gwew*" o Ddowlais hyn o'r blaen, a'n bod ni yn "casglu arian er myned yno!!" Nid rhaid i ni ddweyd mai anwiredd yw pob sill o hyn hefyd. Mae amser wedi ein helpu i'w brofi felly, er eu cywilydd, os oes cywilydd ynddynt. Nid oes, ac ni fu, un bwriad gan y Saint i fyned i Jerusalem. Onid yw yn dy arswydo, ddarllenydd, glywed fod y rhai a hónant fod yn "ddysgawdwyr yr oes," ac yn "*fugeiliaid* y praidd," wedi ymollwng mor rhydd a diegwyddor. Beth a allwn ddysgwyl gan gyhoeddiadau sydd dan bawenau ac anadl rhai fel hyn? Nid mor rhyfedd na cheir amddiffyn ein hunain ynddynt. Gadawn hwynt yn llaw Barnwr yr holl ddaear, a thosturiwn yn fawr o galon dros gyflwr a sefyllfa gaethiwus eu hudolion. Yr Arglwydd grasol o'i ddaioni a rwygo y llen oddiar eu llygaid, fel yr adnabyddont y gwir oleuni, yw fy ngweddi drostynt yn barhaus. Amen.

MERTHYR-TYDFIL: CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

